E. L. Parry

Y farw wedi ei chodi yn fyw
Atebydd
Anerchiad
Beth ydyw yr Efengyl
Beth iw Mormoniaëth
Y Gloriau
Gau Brophwydi
Hanau
Cwcw y Don
Amddiffyniad y Saint
Adolygiad -

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidia," &c.—Malachi.

"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf Apostolion, yn ail Prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau: wedi hynny doniau i iachau, cynorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded Anathema."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac Efe a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn Brophwydi," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond wedi ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—Yr awdwr.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth cyn ei glywed, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon,

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:
ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.
1845.

# RHAGYMADRODD.

---

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol ! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth ; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol ; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, HWN YDWYF." Sy'n cynal fy neheulaw : ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi !

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly ? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir ; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw ; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

# ANNERCHIAD

## Y DEUDDEG APOSTOL YN EGLWYS IESU GRIST; SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

---

### AT HOLL FRENHINOEDD Y DDAEAR, AT RAGLAW, AC AT LYWIAWDWYR UNOL DALEITHIAU YR AMERIG, AC AT LYWYDDION, A HOLL BOBL Y BYD.

[*Cyfieithiedig o'r Saesonaeg.*]

---

Yn Annerch,

Gwybyddwch fod teyrnas Dduw, yr hon, y rhagddywedodd yr hen Brophwydi am dani, ac y gweddiwyd cymaint am ei dyfodiad yn mhob oes, eisioes wedi dyfod; ie, y deyrnas hono ag sydd i lenwi yr holl ddaear, ac i sefyll yn dragywydd.

Rhyngodd bodd i'r Elohim mawr, y Jehofah, lefaru o'r nefoedd yn ychwanegol, a chymdeithasu â dyn ar y ddaear, drwy weledigaethau, a thrwy weinidogaeth Cenhadon Sanctaidd.

Drwy yr offerynau hyn adferwyd, neu roddwyd i'r byd, yr Offeiriadaeth Fawr dragywyddol, yn ol Urdd ei Fab, sef yr Apostoliaeth.

Mae yr Offeiriadaeth oruchel, neu yr Apostoliaeth hon, yn meddu agoriadau teyrnas Dduw, drwy ba rai mae y gallu i rwymo ar y ddaear, yr hyn a rwymir yn y nefoedd, ac i ryddhâu ar y ddaear yr hyn a ryddheir yn y nef; mewn gair, i wneuthur, ac i weinyddu yn mhob peth a berthynant i ordinhadau, cyd-drefniad, llywodraeth, a hyfforddiad teyrnas Dduw.

Mae wedi ei sefydlu yn y dyddiau diweddaf, fel yr adferid pob peth a lefarwyd drwy y prophwydi er dechreuad y byd, er mwyn darparu y ffordd i ddyfodiad Mab y dyn.

Ac yr ydym yn awr yn dwyn tystiolaeth, fod ei ddyfodiad Ef yn agos; ac y gwel yr holl genhedloedd a'u brenhinoedd ef yn dyfod ar gymylau y nef, gyda nerth a gogoniant mawr, cyn pen llawer blwyddyn etto.

Anghenraid fod ymbarotöad mawr i gyfarfod â'r fath amgylc pwysig.

O ganlyniad, yr ydym yn anfon attoch drwy awdurdod o'r uchelder, gan orchymyn i bawb o honoch edifarhau, a dyfod yn ostyngedig fel plant bychain, o flaen mawrhydi Y Sanctaidd Un; a dyfod

at Iesu â chalon ddrylliog, ac âg yspryd cystuddiedig, fel eich bedyddier yn ei enw ef, er maddeuant pechodau, (hyny yw, eich claddu mewn dwfr i gyffelybiaeth ei gladdedigaeth ef, a chyfodi drachefn i fywyd newydd yn ol cyffelybiaeth ei adgyfodiad ef); a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân, drwy arddodiad dwylaw apostolion a henuriaid, yr oruchwyliaeth fawr a diweddaf hon o drugaredd Duw i ddyn.

Tystia yr Ysbryd hwnw i chwi y gwirionedd o'n cenadwri a'n tystiolaeth, efe a oleua eich meddyliau, ac a fydd ynoch yn ysbryd prophwydoliaeth a datguddiad; y pethau a aethant heibio a ddwg efe i'ch côf a'ch dealldwriaeth; a'r pethan sydd i ddyfod a fynega efe i chwi. Cyfrana hefyd i chwi lawer o ddoniau ardderchog a gogoneddus; megys dawn iachâu y cleifion, a derbyn iachâd, drwy arddodiad dwylaw yn enw'r Iesu; bwrw allan gythreuliaid; a hyd yn nod i weled gweledigaethau, a chael ymddiddan ag Angylion ac Ysbrydion o'r byd anweledig.

Drwy oleuni yr Ysbryd hwn, yr hwn a dderbyniwch drwy weiniyddiad yr ordinhadau—drwy awdurdod a grym yr Apostoliaeth a'r Offeiriadaeth Sanctaidd, galluogir chwi i ddeall, ac i fod yn blant y goleuni; y byddoch yn barod i ddianc rhag yr holl bethau sydd yn dyfod ar y ddaear, ac i sefyll gerbron Mab y Dyn.

Yr ydym yn tystiolaethu mai yr athrawiaeth hon yw athrawiaeth efengyl yr Arglwydd Iesu Grist yn ei chyflawnder; mai hon yw yr unig wir efengyl dragywyddol, ac anghyfnewidiol; a'r unig drefn a ddatguddiwyd i'r ddaear er cadwedigaeth dynolion.

Yr ydym hefyd yn tystiolaethu fod yr "*Indiaid*" (fel eu gelwir) sydd yn Ngogledd a Deheubarth yr Amerig, yn weddillion o lwythau Israel, megys yr amlygwyd eisioes drwy ddatguddiad, a'r darganfyddiad o'u hen Oraclau, a'u côf-lyfrau; a'u bod ar gael eu casglu ynghyd, eu gwareiddio, a'u gwneuthur yn *un genedl* yn y tir godidog hwn

Y deuant hefyd i wybodaeth o'u cyn dadau, ac o gyflawnder yr efengyl; y cofleidiant hi, ac y deuant yn gangen gyfiawn o dŷ Israel.

Yr ydym yn tystio ymhellach, fod yr Arglwydd wedi pennodi Dinas Sanctaidd, a theml, i gael eu hadeiladu ar y cyfandir hwn, fel y gweinydder yr ordinhadau a'r cynnysgaeddiad a berthynant i'r Offeiriadaeth; fel y delo y Cenhedloedd, a'r gweddill o Israel yno, i addoli yr Arglwydd, i gael eu hyfforddi yn ei ffyrdd, ac i gerdded yn ei lwybrau; yn fyr, i gwblhau eu darpariadau erbyn dyfodiad yr Arglwydd.

Yr ydym yn tystio hefyd, fod yn orchymynedig i'r Iuddewon ymhlith yr holl genhedloedd, yn enw y Messïah, i barotôi i ddychwelyd i Jerusalem yn Palestine, i adeiladu y ddinas honno, a theml i'r Arglwydd: ac hefyd i drefnu a sefydlu eu llywodraeth wladwriaethol dan eu llywiawdwyr, eu barnwyr, a'u cynghorwyr eu hunain yn y wlad honno.

Canys bydded hysbys hyn iddynt, ein bod *ni* yn awr yn dal allweddau yr offeiriadaeth a'r deyrnas, ag sydd yn fuan i gael eu hadferu iddynt hwy. Am hynny, bydded iddynt hwythau hefyd edifarhau, a darparu i roddi ufudd-dod i ordinhadau Duw.

Ac yn awr, O chwi frenhinoedd, llywyddion, a phobloedd yr holl genhedloedd, clywch air yr Arglwydd; canys mae y gorchymyn hwn i chwi, ac annogir chwi, nid yn unig i edifarhau ac ufuddhau i'r efengyl yn ei chyflawnder, a thrwy hynny ddyfod yn aelodau, neu ddinasyddion o deyrnas Dduw; ond gorchymynir i chwi hefyd yn enw Iesu Grist, i roddi eich arian, eich aur, eich llongau, eich agerfadau; eich cledrffyrdd, eich meirch, cerbydau, a'ch camelod, mewn gwasanaeth prysur, i gyflawni yr amcanion hyn; canys bydded hysbys i chwi, mai yr unig iachawdwriaeth a adawyd i'r Cenhedloedd, ydyw drwy eu cael yn yr un cyfammod, ac yn addoli wrth yr un cyssegr a phobl Israel. Mewn gair, rhaid iddynt ddyfod dan yr un faner; canys bydd un Arglwydd, a'i enw yn un, ac Efe a fydd yn frenin dros yr holl ddaear.

Mae Saint y dyddiau diweddaf, er eu sefydliad cyntaf yn y flwyddyn 1830, wedi bod yn dylodion, yn cael eu herlid, eu niweidio, ac wedi bod yn bobl gystuddiedig. Maent wedi aberthu eu hamser, a'u meddiannau yn helaeth, er mwyn sefydlu teyrnas Dduw, ac eangu ei therfynau drwy weinidogaeth yr efengyl. Dioddefasant eisiau, newyn a charcharau, eu hyspeilio o'u tai, eu tiroedd, eu cartrefi, a'u rhyddid gwladol, o herwydd eu ystiolaeth.

Ond nid hyn yw'r cwbl. Eu sefydlwr cyntaf, Mr. Joseph Smith, yr hwn a wnaethpwyd gan Dduw yn brophwyd ac apostol, mawr mewn gair a gweithred; a'i frawd Hyrum, yr hwn hefyd oedd yn brophwyd, a ferthyrwyd yn greulon o achos y gwirionedd, ac a selissant eu tystiolaeth a'u gwaed; ac etto, nid yw y gwaith ond megys yn dechreu. Y mae gwaith mawr, gogoneddus, ac ardderchog, etto i gael ei wneuthur, drwy ledaenu y gwirionedd a'r deyrnas ymhlith y Cenhedloedd: drwy adferu, rheoleiddio, addysgu, a sefydlu yr Iuddewon; trwy gasglu, hyfforddi, cynnorthwyo, gwareiddio, dysgu, a gweinyddu iachawdwriaeth i weddill Israel, ar y cyfandir hwn: trwy adeiladu Jerusalem yn Palestine; ynghyd â dinasoedd, trefi, temlau, a chyssegrau Zion yn yr Amerig; a thrwy gasglu y Cenhedloedd hefyd i rwymyn y cyfammod a'r gyfundrefn; a'u haddysgu hwythau ymhob peth a berthyn i'w sancteiddiad a'u darpariad, fel y byddo holl eglwys y Saint, yn Genhedloedd, Iuddewon, ac Israeliaid, wedi ei pharotoi, fel priod-ferch, erbyn dyfodiad yr Arglwydd.

Ac yn awr, O chwi frenhinoedd, llywodraethwyr, rheolwyr, cynghorwyr, barnwyr, deddfwyr, pendefigion, arglwyddi, a chyfoethogion y ddaear, a adewch chwi ni yn yr ymdrech, i lafurio heb eich cymhorth, mewn gwaith mor fawr? ai ynte, a gyfranogwch chwi gyda ni yn y llafur, y lludded, yr hunan-ymwadiad, a gogoniant yr unrhyw?

Oni pherthyna y peth hwn i chwi yn gystal ag i ninnau? Onid yw wedi ei roddi er adnewyddiad y byd—a dysgu i'r cenhedloedd ddoethineb—a llenwi y ddaear â goleuni, gwybodaeth, gwirionedd, undeb, tangnefedd, a chariad? fel y deuai y milflwyddiant mawr, neu y Sabboth o orphwysfa hwnw, a ddysgwyliwyd cyhyd, ac y gobeithir am dano gan bob dyn daionus? Yr ydym ni yn tystio mai felly y mae; a'r cyflawniad o'n geiriau a'u prawf yn wirionedd, i filiynau etto a enir, ac y mae rhai yn awr yn fyw a welant y diweddglo o honynt.

Deuwch, ynte, yn gynnorthwy i'r Arglwydd, ac i ninnau. Estynwch eich amddiffyniad a'ch cydweithrediad ewyllysgar ac ëofn yn y chwyldröad moesol, a gogoneddus hwn.

Etto, dywedwn, drwy air yr Arglwydd, wrth y bobloedd yn gystal â'u llywodraethwyr, y mae anghenraid am eich cefnogaeth gref, a'ch cymmorth yn y gwaith ardderchog hwn; ac yr ydym y waith hyn yn eich cymhell, yn enw Iesu, i ymaflyd yn wrol ynddo, o'r dydd hwn allan.

Agorwch ddrysau eich tai, eich addoldai, a'ch calonnau i'r gwirionedd; gwrandewch ar apostolion a henuriaid eglwysig y saint pan y deuant i'ch dinasoedd a'ch cymmydogaethau; darllenwch, a chwiliwch yr ysgrythyrau yn fanwl a ydyw y pethau hyn felly; darllenwch gyhoeddiadau y Saint, a chynnorthwywch hwy i'w cyhoeddi i eraill; ymdrechwch gael tystiolaeth yr Ysbryd, deuwch, ac ufuddhewch i'r efengyl ogoneddus yn ei chyflawnder; a rhoddwch eich cymhorth i adeiladu dinasoedd, a chyssegrau ein Duw.

Yn fuan rhaid i feibion a merched Zïon, gyssegru rhan helaeth o'u hamser, i hyfforddi plant y goedwig; canys anghenraid iddynt hwythau gael eu dysgu a'u hyfforddi yn y celfyddydau gwareiddiadol, yn gystal ag yn yr efengyl. Rhaid eu dilladu, eu porthi, a'u dysgu yn egwyddorion ac ymarferiadau diweirdeb, gweddeidd dra, dirwest, glanweithdra, a diwydrwydd: llaw-a pheirianawl gelfyddydau; iawn drefn, [illegible]
arferiadau, cerddoriaeth, a phob peth arall a dueddant at eu boneddigeiddio, moesoli, puro, derchafu, a'u gogoneddu hwynt, megys meibion a merched, breiniol dŷ Israel a Joseph, y rhai fo yn ymbarotôi erbyn dyfodiad y priod-fab.

Gwybyddwch, yn ddïau, pa un bynnag a ddeuwch chwi yn gynorthwy i'r saint yn y gwaith mawr hwn, ai diystyru y genadwri hon a wnewch, drwy attal eich cefnogaeth a gwrthod cydweithredu, na rwystrir llwyddiant a hollol oruchafiaeth y gwaith; canys gwaith y Duw mawr ydyw; am gwblhâd pa un y mae Efe wedi ymrwymo â'i AIR a'i LW, er cyn seiliad y byd. Y mae yr un addewid a llŵ wedi eu hadnewyddu i ddyn, ymhob goruchwyliaeth olynol, er y dechreuad, AC Y MAE WEDI CAEL EI SICRHAU ETTO DRWY EI LEF O'R NEFOEDD YN YR OES HON; mae efe, gan hyny, wedi ymrwymo i'w gyflawni, ac i orchfygu pob rhwystrau ar ei ffordd.

Gan hyny, nid i Dduw, nac i'w Saint, ond iddynt eu hunain y bydd y golled, os esgeulusa dynion wneyd eu dyledswydd yngwaith mawr yr adferiad rhyfeddol hwn.

Mae ystyriaeth arall o fawr bwys i bobloedd y byd a'i llywodraethwyr, mewn cyssylltiad â'r gwaith mawr hwn. Hyny yw;—pan y cynnydda y gwaith yn ei fynediad ymlaen, ac y delo yn wrthrych mwy-

fwy o sylw, ac o ryfeddod gwladol a chrefyddol, ni fydd un brenin, rheolwr, na deiliad—un gymdeithas nac unigolyn yn sefyll yn *neutral*; bydd pawb dan ddylanwad y naill Ysbryd neu y llall, a safant yn erbyn neu o blaid teyrnas Dduw, a'r cyflawniad o'r prophwydoliaethau ynghylch yr adferiad mawr, a dychweliad ei bobl gyfammodol o'u hir wasgariad.

Rhai, yn debyg i'r hybarch Jethro, tad-ynghyfraith Moses, neu yr enwog Cyrus, a gynnorthwyant, ac a fendithiant bobl Dduw; neu, fel Ruth y Moabes, a adawant eu pobl, eu cyfathrach, a'u gwlad, ac a ddywedant wrth y Saint, neu wrth Israel—"Eich pobl chwi fydd fy mhobl i, â'ch Duw chwi fydd fy Nuw innau." Eraill a rodiant ar hyd llwybrau Pharao neu Balak; caledant eu calonnau i wrthryfela yn erbyn Duw, a cheisiant ddinistrywio ei bobl. Y rhai hyn a gyfathrachant â'g offeiriaid a phrophwydi, y rhai a garant gyflog anghyfiawnder, ac fel Balaam, a geisiant lef i felldithio a swyno Israel.

Ni ellwch, gan hynny, sefyll yn segur, na bod yn edrychwyr digyffro ar y golygfeydd a'r amgylchiadau hyny, pa rai sydd â'r fath dueddiad yn eu nhatur, i ddwyn yr holl genhedloedd, a'u credöau at yr un safon; ac felly rhoi terfyn ar yr holl Babel ffurfiau ac enwadau, ymryson a rhyfela. Yn awr, arweinir chwi, naill ai gan yr Ysbryd daionus, i fwrw eich cyfran, a chwi myd rhan fyw gyda Saint y Goruchaf, a phobl gyfammodol yr Arglwydd; neu ar y llaw arall, chwi a fyddwch yn elynion proffesedig iddynt ac â'u gwrthwynebwch hyd eithaf eich gallu.

Ymleda yr ymraniad mawr hwn i'r fath eithafion, nes y bydd cenhedloedd yr hen fyd yn cyduno i wrthwynebu y pethau hyn â'u holl nerth bydol. A fwriant fyddin anferth i Palestina yn erbyn yr Iuddewon, gwarchaeant eu dinas, a dygant drigolion Jerusalem i eithafion trueni a chyfyngdra Yna y dechreua ymdrech; ac yna yr ymddibynna tynged cenhedloedd, ac ymerodraethau ar un frwydyr. Yn y frwydyr hono yr enwoga swyddogion a phobl Judah eu hunain, drwy eu gwroldeb a'u dewrder buddugoliaethus; y gwan yn eu plith a fydd fel Dafydd, a'r grymus yn eu plith megys Duw, neu megys angel yr Arglwydd.

Yn y dydd hwnnw yr Arglwydd a dywallt ar drigolion Jerusalem ysbryd gras a gweddïau, a hwy a edrychant ar y Messiah yr hwn a wânasant.

Canys wele! efe a ddisgyn o'r nefoedd fel amddiffynwr yr Iuddewon, ac a gwblhâ fuddugoliaeth iddynt. Ei draed ef, yn y dydd hwnnw, a safant ar fynydd yr Olewydd, yr hwn a hollt yn ddau yn ei wyddfod, a'r naill hanner a symmuda tua'r gogledd, a'r hanner arall tua'r dehau, a bydd dyffryn mawr yn y fan lle'r erys y mynydd yn awr.

Y ddaear a gryna oddiamgylch iddo, pan y bydd temhestl, cenllysg, a phlâau, yn gymysgedig â thrwst arfau, rhuad magnelau, a bloeddiadau a griddfannau yr archolledig a'r rhai yn meirw.

Yn y dydd hwnnw y torir yn ddarnau yr holl rai a fyddant yn gwarchae yn erbyn Judea a Jerusalem, ïe, pe byddai hyd yn nod holl bobl y byd wedi ymgasglu yn eu herbyn.

Bydd y fuddugoliaeth drwyadl hon i'r Iuddewon mor annisgwyliadwy i'r cenhedloedd, yn gyssylltiedig a dyfodiad y Messïah, a'r pethau

dilynol eraill, fel y newidir holl gyfundraethau, sefydliadau, a llywodraethau crefyddol a gwladwriaethol Ewrop ac Asia.

Bydd yr Iuddewon fel cenedl, o'r dydd hwnnw allan, a'u dinas, a'u cyssegr, yn sanctaidd. Yno hefyd y sefydla y Messïah ei orsedd-faine, a chanol-bwynt ei lywodraeth. Yna y bydd Jerusalem yn galon yr ymerodraeth, yn ganol-bwynt, ac yn brif ddinas yr hen fyd.

Holl deuluoedd y wlad a ânt i fynu i Jerusalem, unwaith yn y flwyddyn, i addoli y Brenin, Arglwydd y lluoedd, ac i gadw gŵyl y pebyll. Y rhai nad ânt i fynu, ni bydd gwlaw iddynt, ond hwy a darewir a sychder ac a newyn; ac os teulu yr Aipht nid ânt i fynu (lle nad yw yn gwlawio) hwy a darewir a'r plâ. Ac felly cyflawnir pob peth a lefarwyd trwy enau y prophwydi erioed; ynghyd a gair yr Arglwydd, yr hwn yn awr a ddatguddiwyd er cadarnhau a chwblhau y cyfan. Ie, holl frenhinoedd, llywodraethwyr, offeiriaid, a phobl Ewrop, a'r byd, a gânt wybod yr un waith hon, fod Duw yn Israel, yr hwn, megys yn y dyddiau gynt, a ddyry allan ei lef, ac yr ufuddheir iddo.

Rhaid i lysoedd Rhufain, Llundain, Paris, Constantinople, Petersburgh, a'r lleill oll, roddi i fynu yr ymryson, bod yn ddarostyngedig, a thalu teyrnged i un canol-bwynt, ac i un Mawrhydi galluog; onidê, bydd GORSEDDFEINCIAU YN CAEL EU TAFLU I LAWR, A THEYRNASOEDD YN PEIDIO A BODOLI.

Rhaid i offeiriaid, esgobion, a phawb, pa un bynnag ai Pabyddion, Protestaniaid, ai Mahometaniaid, roddi i fynu bob proffes o hawl i'r offeiriadaeth ynghyd a thitlau, anrhydedd, credöau ac enwau, a pharchu ac ufuddhau i'r wir offeiriadaeth freiniol, yn ol urdd Melchisedec ac yn ol urdd Aaron; wedi yr adferir hi i'w chyfreithlon berchenogion—boneddigion Israel; neu, y sychder a'r newyn a'u difa hwynt, a'r plâ a'u hymlid yn fuan i'r pwll, megys y gwnaed a Chora Dathan, ac Abiram, y rhai a dreisiasant yr offeiriadaeth, gan wrthryfela yn erbyn offeiriaid a phrophwydi detholedig Duw yn nyddiau Moses.

Pan y dirwyna'r holl bethau hyn yn mlaen ar ol cylynio i amser, ac eu cyflawnir yn yr hen fyd; ymddengys ar y cyfandir hwn olygfa ardderchog a gogoneddus, yn tra rhagori ar yr olygfa a ddesgrifiwyd eisioes.

A'r Arglwydd a wna yr hon sydd yn cloffi yn weddill, ac a gasgl yr hon a wasgarwyd, ac a anrheithiwyd; efe a wna yr hon a fwriwyd yn mhell yn genedl gref ac a deyrnasa arnynt yn Mynydd Zion, o'r pryd hwnnw yn dragywydd. Neu, mewn geiriau eraill, Efe a gasgl y brodorion, gweddillion Joseph yn yr Amerig, ac a'u gwna hwynt yn genedl gref a grymus. Efe a'u gwareiddia ac a'u haddysga hwynt, ac a sefydla ddinas sanctaidd, a theml, ac eisteddle ei lywodraeth yn eu plith, yr hon a elwir Zïon; ac yno y bydd ei babell, ei gyssegr, ei orsedd, a'i eisteddle ymerodraethol, dros holl gyfandir Gogledd a Deheubarth yr Amerig, hyd byth; mewn gair, bydd i'r byd gorllewinol, yr hyn a fydd Jerusalem i'r byd dwyreiniol.

Yno, yr ymwél y Messïah â hwy yn bersonol: a'r holl Saint, y rhai y pryd hyn fyddant wedi adgyfodi a ddeuant gydag ef, ac efe a sefydla ei deyrnas, a'i gyfraith dros yr holl wlad.

I'r ddinas hon, neu, i'w changhenau, yr ymgasgl y cenhedloedd, megys at y canol-bwynt o oleuni a gwybodaeth; ïe, y cenhedloedd, eu

brenhinoedd. a'u pendefigion, a ddywedant, Deuwch, awn i fynu i fynydd Zïon, ac i deml yr Arglwydd, yn y fan lle mae'r offeiriadaeth sancteiddd yn sefyll i weinyddu yn wastadol gerbron yr Arglwydd; fel ein dysger yn fanylach, ac y derbyniom ordinhadau, y maddeuant, y sancteiddiad, a'r prynedigaeth; a chael felly ein mabwysiadu i deulu Israel, ac y caffom ein cynnwys o fewn yr un cyfammod addawedig.

Caiff Mab diystyredig y goedwig, yr hwn sydd wedi bod yn crwydro, yn isel ei wedd, a gofidus, gan ddyoddef llawer o warth; y pryd hwnnw sefyll yn mlaen yn wrol ac ëofn, a dywedyd wrth y cenhedloedd, pa rai sydd wedi bod yn cenfigenu wrtho—"*Myfi yw Joseph; ai byw fy Nhad?*" neu, mewn geiriau eraill, Yr wyf fi yn un o deulu y Joseph hwnnw a werthwyd i'r Aipht. Chwi â'm casasoch *i*, a'm gwerthasoch *i*, ac a feddyliasoch i *mi* farw; ond Wele! yr ydwyf fi etto yn fyw, ac yn etifedd i feddiannau, titlau, anrhydedd, offeiriadaeth, teyrn-wïalen, coron, gorsedd, bywyd, a dyrchafiad tragywyddol fy nhadau, y rhai sydd yn byw yn oes oesoedd.

Yna efe a ordeinir, a olchir, a enneinir ag olew cyssegredig, ac a wisgir, mewn lliain main, hyd yn nod yngwisgoedd gwychion, gogoneddus, a breiniol yr offeiriadaeth ddwyfol, yr hon sydd yn ol urdd Mab Duw; efe a â i mewn i gynnulleidfa yr Arglwydd, ïe, i'r sancteiddiolaf; yno i gael ei goroni ag awdurdod a nerth, i'r hyn ni bydd diwedd. Ac Ysbryd yr Arglwydd y pryd hwnnw a ddisgyn arno, megys gwlith ar fynyddoedd Hermon, ac megys cawodydd o wlaw ffrwythlon ar berlysiau paradwys.

Ei galon a ymëanga gan wybodaeth, mor ëang a thragywyddoldeb, ei feddwl a ddirnad faith greadwriaeth ei Dduw, a'i fwriadau tragywyddol o brynedigaeth, y gogoniant, a'r dyrchafiad, yr hyn a arfaethwyd yn y nefoedd cyn seiliad y byd, ond a amlygwyd yn y dyddiau diweddaf hyn, fel y delo cyflawnder y cenhedloedd i mewn, ac y gogoneddid Israel. Efe hefyd a wêl ei Waredwr, ac a fydd gyflawn o'i bresennoldeb, pan y bydd cwmmwl ei ogoniant yn amlwg yn y deml.

Dinas Zïon, gyd â'i chyssegr, a'i hoffeiriadaeth, ynghyd â gogoneddus gyflawnder yr efengyl, a ffurfiant y safon, yr hwn a rydd ddiwedd ar yr holl wrth-gredöau, a'r ymrysonau gwladwriaethol, drwy uno yr holl werin lywodraethau, talcithiau, tiriogaethau, cenedlaethau, llwythau, ieithoedd, pobloedd, a sectau Gogledd a Deheubarth yr Amerig, a'u gwneyd yn un teulu cyffredinol, wedi eu huno a rhwymyn brawdol gariad; pan rhyddhâ gwirionedd a gwybodaeth hwynt oll, ac y bydd cariad yn rhwymyn eu hundeb.

Yr Arglwydd a fydd eu brenin a'u deddf-roddwr; pob rhyfel wedi darfod, a heddwch yn ffynnu am fil o flynyddau.

Felly, caiff llywodraethwyr, seneddwyr, dinasyddiou, ac anwariaid yr Amerig, wybod "*yr un waith hyn*" fod Duw yn Israel, a rydd allan ei lef, ac a'i cwblhâ.

Americaniaid! Mae y gwaith mawr a rhyfeddol hwn, eisioes wedi ei ddechreu yn eich plith, a rhaid ei gwblhâu.

Gwahoddir chwi yn serchog yn awr i'w chwilio yn drwyadl, ac i gyfranogi o hono, a'n cynnorthwyo i'w gwblhau.

Os gofynwch, beth a ddylech wneuthur?

Attebwn; amddiffynwch y Saint; rhoddwch iddynt eu breintiau teilwng; taenwch faneri y gyfundraeth a'r gyfraith dros eu cartrefi, eu dinasoedd, eu gwragedd a'u plant. FEL Y PEIDIONT A CHAEL EU CIGYDDIO, EU MERTHYRU, YSPEILIO, A'U HALLTUDIO, fel y caffont lonyddwch i fyned ymlaen gyda'r gwaith a a orchymynodd Duw iddynt ei wneuthur.

Rhoddwch y cyfreithiau mewn grym ar y troseddwyr, fel y glanhäoch eich godrau oddiwrth WAED GWIRION.

Gwnewch gyfreithiau. hefyd, i ad-dalu iddynt y miliynau a gollasant drwy eich creulon esgeulusdod.

Cyfrenwch yn hael o'ch meddiannau i'w cynnorthwyo, fel y gallant gyflawni eu cennadwri.

Parhaed llywodraeth yr Unol Daleithiau i gasglu ynghŷd, a threfedigaw gweddillion llwythau Israel (yr Indiaid), gan eu porthi, eu dilladu, a'u noddi. Ymdrechwch i'w gwareiddio a'u dwyn i undeb â'u gilydd; ac hefyd, i'w dwyn i wybodaeth o'u tarddiad Isräelaidd, ac o gyflawnder yr efengyl, yr hon a amlygwyd i, ac a ysgrifenwyd gan eu cyndadau yn y wlad hon, y *côf-lyfr* o'r hyn a ddaeth yn awr i'r amlwg.

Yr oraclau hyn, ynghyd a'r ysgrythyrau eraill, a'r offeiriadaeth, a'r awdurdod a gyfranwyd yn awr i'r Saint, ydynt y moddion effeithiol i'w troi, a'u hachub hwynt; tra bydd credöau dynol, a ffurffau disylwedd Sectariaeth, yn hollol aneffeithiol, ac annigonol i'r gorchwyl.

Yr Arglwydd a lefarodd, a phwy ai diddyma? Efe a roddodd ei lef, a phwy a'i gwrthddyweda? Y mae Efe wedi estyn allan ei fraich, a phwy a'i try yn ol?

Paham na ddaw llywodraethwyr a deiliaid y Taleithiau hyn yn hysbys o'r oraclau hyn? Maent wedi eu cyhoeddi yn eu plith i'r dyben hynny. Yna caent wybod beth sydd raid ei wneuthur â'r gweddillion hyn, a'u dyledswydd eu hunain mewn cyssylltiad ag adferiad Israel, ac â theyrnas Duw. Caent hefyd wybod beth yw amcan llafurwaith, a thynghedfen Saint y dyddiau diweddaf, fel eglwys a phobl. Mae'r pwnc hwn wedi bod, os nad yw yn parhau i fod, yn destyn syndod a phryderwch nid ychydig, ac ar amserau, gryn gyffro ymhlith y bobl, hyd yn nod er sefydliad cyntaf y Saint yn y flwyddyn 1830.

Ond mwy na hyn oll, caent wybod tynged y llywodraeth hon, ynghyd a phob llywodraeth arall ar gyfandir Amerig; a bwriad Duw mewn perthynas i'r cyfandir hwn, er dechreuad yr oesoedd hyd yn awr, ac o'r pryd hyn allan, hyd nes yr â y nef a'r ddaear heibio, ac eu crëir o newydd. Mae yr holl bethau hyn wedi eu dangos yn eglur yn yr hen oraclau hynny, ac yn prysuro at gyflawniad.

Os gwna y llywodraethwyr a'r bobloedd eu hunain yn hysbys o'r egwyddorion pwysig hyn, a chyflawni y dyledswyddau a nodwyd, teilyngant barhad o'r bendithion gwladol, a'r breintiau mawrion y maent eisioes yn eu mwynhau; ïe, cânt helaethach a rhagorach breintiau o lawer, o law haelionus *yr Hwn*, a'u dyrchafodd ar y cyntaf i'r mawredd gwladol y maent yn ei feddu yn awr. Pe gwnaent felly, llwyddent, ymledaenent, a chryfhäent eu llywodraeth, yn gadarnach o hyd yn y wlad ëang hon, hyd nes y byddai, nid yn unig Texas ac Oregon, ond yr holl gyfandir ëang, o fôr i fôr, wedi ymuno â hwynt, a dyfod dàn eu

nhawdd, yn un ymerodraeth fawr, gadarn, a heddychlon mewn Rhyddid ac Undeb.—Deuai Miliynau o bobloedd o bob cenedl, a'u haur, a'u harian gyda hwy, i wladychu dan eu baner, nes y byddai, cyn pen hanner cànrif etto, dros gan' miliwn o ddynion, oll yn trigo mewn tangnefedd a rhyddid yn y wlad; tra yr ymestynai gwareidd-dra, celfyddiaeth ac amaethyddiaeth hyd derfynau eithaf y cyfandir: gan wneyd "yr anialwch megys Eden, a'r diffeithwch fel gardd yr Arglwydd." Neu, ped ewyllysient fyned etto ym aen ac ufyddhau i gyflawnder yr efengyl, byddent yn deilwng o gael, nid yn unig bendithion tymhorol, ond hefyd ddoniau yr Ysbryd Glân, gan fod yn barod i dderbyn eu brenin,—y Messïah,—a chael preswylio yn dragywydd o tàn ei lywodraeth heddychlon ef, yn y wlad odidog hon.

Eithr cyhyd ac y parhant yn anystyriol ac anwybodus o'r egwyddorion hyn; tra parhant i chwythu allan enllibiau, celwyddau, cenfigenau, a llofruddiaeth, yn erbyn y Saint, ac yn erbyn gweddill Israel, gan ddywedyd yn ddrwg am, a gwrthsefyll y pethau ni wyddant o'u herwydd; cyhŷd a hynny y bydd yn rhaid i waed y saint, a merthyron Iesu, barhau i ddylifo; ac y parhâ yr eneidiau dan yr allor i waeddi "pa hyd Arglwydd y dïeli ein gwaed" ar y wlad euog hon; ïe, hyd nes y del y Messïah i weinyddu cyfiawnder i'w Saint, a chyflwyno iddynt y llywodraeth.

Oferedd yw meddwl y gwna sŵn eich drylliau rhuad eich magnelau, twrf eich cadwyni, nerth eich bàrau, neu awch eich cleddyfau, ladd, na gwanhau ffydd, gobaith, na gwybodaeth Saint y dyddiau diweddaf. Maent yn *gwybod* rhai *ffeithiau*, a pharhant i *wybod ffeithiau*, pan y bydd angau rhyfel, a chyflafan yn ymgynddeiriogi o'u hamgylch. Ni allant gau eu llygaid ar y ffeithiau hyn, er mwyn boddio eu llywodraethwyr, eu barnwyr, a'r werin aflonydd.

Yr ydym yn gofyn yn ddifrifol i ein llywodraethwyr, a'n cyd-ddeiliaid eraill, pa un a ydyw yn fradwriaeth i *wybod*, nac, hyd yn nod i gyhoeddi [illegible] hyn a *wyddom?* Os ydyw, yna, tarewch y dyrnod llofruddiog; [illegible] taf ar yr hyn sydd genym i'w ddywedyd ond gwrandewch yn [illegible]

Gan hyny, yr ydym yn dywedyd boed mewn angau, neu einioes, mewn rhwymau, neu ryddid: fod y Duw mawr wedi llefaru yn yr oes hon.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi rhoddi i ni yr offeiriadaeth sanctaidd, a'r apostoliaeth, ac agoriadau teyrnas Dduw, i ddwyn oddiamgylch adferiad pob peth, fel yr addawyd drwy y prophwydi sanctaidd erioed.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi datguddio tarddiad, ac oraclau trigolion cyntefig yr Amerig, a'u tynghedfen ddyfodol.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi datguddio cyflawnder yr efengyl, ynghyd a'i doniau, ei bendithion, a'i hordinhadau.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi gorchymyn i *ni* ddwyn tystiolaeth o hyn, yn gyntaf, i'r Cenhedloedd, yna i weddill Israel, ac i'r Iuddewon.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi gorchymyn i ni gasglu ei Saint ynghyd ar y Cyfandir hwn, ac i adeiladu dinasoedd a chyssegroedd sanctaidd.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Mae efe wedi dywedyd, y caiff y Cenhedloedd ddyfod i mewn dan yr un cyfammed ac efengyl; a chael eu cyfrif gyda thŷ Israel, ac y byddant yn bobl bendigedig yn y wlad ddaionus hon hyd byth, os edifarhant, a'i chofleidio.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Efe a ddywedodd hefyd, os nad edifarhant, a dyfod i wybodaeth o'r gwirionedd, gan beidio a gwrthryfela yn erbyn Zion, a chau fwrw ymaith lofruddiaeth, celwydd, balchder, *priestcraft*, godineb. ac aflendid; mai buan y trengant oddiar wyneb y ddaear, ac y bwrir hwynt hyd yn uffern.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Efe a ddywedodd, fod yr amser yn agos, pan y cesglir yr Iuddewon i Jerusalem.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Efe a ddywedodd, y datguddir deg llwyth Israel yn nhir y gogledd, ynghyd a'u cof-lyfrau a'u horaclau, yn ddarpariadol i'w dychweliad, a'u hundeb a Judah, nid i gael eu gwasgaru mwy.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Efe a ddywedodd, mai pan gyflawner yr holl ddarpariadau hyn, yn y wlad hon, ac yn Jerusalem, a phan breget hir yr efengyl yn ei chyflawnder, ymhlith yr holl genhedloedd, er tystiolaeth, y daw efe, a'i holl saint gydag ef, i deyrnasu ar y ddaear am fil o flynyddoedd.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Efe a ddywedodd, na ddaw efe yn ei ogoniant i ddinystrio yr annuwiolion, hyd nes y rhybyddir hwynt o'r pethau hyn, ac y bydd y parotoadau hyn i'w dderbyn wedi eu cwblhau.—*Ac yr ydym ni yn gwybod hynny.*

Yn awr, gydwladwyr, os yw y *wybodaeth* hon, neu ei chyhoeddi, yn *fradwriaeth*, neu *drosedd*, nid ydym ni yn gwrthod marw.

Ond bydded yn hysbys i chwi, pa un bynnag ai byw ai marw fyddwn ni, y caiff geiriau tystiolaeth yr Annerchiad hwn, sydd yn cael ei anfon attoch, eu cyflawni yn sicr.

Nef a daear a ânt heibio, ond ni fydd un iot, nac un tipyn o'i air datguddiedig ef heb ei gyflawni.

Am hynny, etto, dywedwn wrth yr holl bobloedd, edifarhewch, a bedyddier chwi yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân, ac a gewch wybod y gwirionedd, a'ch cyfrif gyda thŷ Israel.

Unwaith etto, yr ydym yn eich gwahodd chwi holl frenhinoedd, llywyddion, rheolwyr, barnwyr, a phobloedd y byd, i'n cynnorthwyo ni, Saint y dyddiau diweddaf; ac hefyd yr Iuddewon, a gweddill Israel, drwy eich dylanwad eich nodded, a'ch arian a'ch aur; fel yr adeilader dinasoedd Zion a Jerusalem, a themlau a chyssegrau ein Duw; ac y cyflawner yr adferiad mawr, i ddwyn i fewn ogoniant y dydd diweddaf.

Fel y byddo gwybodaeth, gwirionedd, goleuni, cariad, heddwch, undeb, anrhydedd, gogoniant, ac ardderchawgrwydd, yn llanw y ddaear; ynghyd a bywyd tragywyddol a llawenydd.

Fel y darfyddo marwolaeth, caethiwed, trais, rhyfel, galar, gofid, a phoen am byth o'r tir, ac y byddo pob deigryn yn cael ei sychu oddiar bob llygad yn y wlad.

Mewn cyflawniad o'r gwaith a roddwyd iddynt, bydded i'r Saint

drwy'r byd; a phawb eraill a deimlant awydd dros waith Duw, anfon eu rhoddion, eu degymau, a'u hoffrymau, er adeiladu teml yr Arglwydd, yr hon sydd yn cael ei hadeiladu yn awr yn ninas Nanvoo, yn nhalaith Illinois.

Deuant hefyd a'u haur, a'u harian, eu nwyfau, a'u crefftwyr, i sefydlu gweithfaau, a chrefftiau o bob natur, fel yr adeilader y ddinas, ac y byddo gwaith er cynnorthwyo y tlodion, a chryfhau dwylaw y rhai sydd wedi dioddef pwys a gwres y dydd; wedi gwneuthur hunan-ymwadiad mawr, ac aberthu yn helaeth, er sylfaenu teyrnas Dduw, a bod yn offerynol i ddwyn y gwaith ymlaen hyd yma.

Yr ydym hefyd yn dymuno yn daer, a phwysig, ar holl olygwyr y newyddiaduron, drwy'r holl wlad hon, a phob gwlad arall, i gyhoeddi yr Annerchiad hwn. Mae yn ddïau yn cynnwys newyddion o bwys, yn enwedig i'r rhai hynny sydd yn gweddïo yn feunyddiol, "*Deued dy deyrnas; gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd.*"

Dymunir ar y Llywydd Wilford Woodruff, yr hwn sydd yn arolygu cyhoeddiadau Saint y dyddiau diweddaf yn Llynlleifiad, yn Lloegr, i ledaenu yr Annerchiad hwn mor gyhoeddus ag y byddo modd, drwy Loegr, Scotland, Iwerddon, ac Isle of Man.

Dymunir ar Capt. Jones, ein Gweinidog dros Gymru; i'w gyfieithu, a'i argraffu yn yr iaith Gymraeg, a'i ledaenu drwy y wlad honno.

Dymunir hefyd iddo gael ei gyfieithu i'r Ellmynaeg, gan ryw rai o'n henuriaid Ellmynaidd, a i gyhoeddi yn y wlad hon, ac hefyd ar gyfandir Ewrop; ynghyd ag yn yr Hispaenaeg a'r Ffrancaeg.

Dylai ein henuriaid Norwegaidd, ei gyfieithu a'i gyhoeddi yn eu hiaith, yn Norway, Illinois, ac yn Norway yn Ewrop.

Dylai Henuriad Addison Pratt, ein Cenhadwr yn Ynysoedd Sandwich, ei gyhoeddi yno hefyd.

Yr ydym yn gobeithio hefyd y gwna ein cyfeillion, yr Iuddewon, drwy'r byd, ei gyhoeddi a'i ledaenu yn y gwahanol dafod-ieithoedd, hyd y gallant.

Ac yn olaf, er nad lleiaf, taer erfyniwn ar olygydd y *Cherokee Advocate* ac eraill o weddill Joseph, i gyhoeddi yr unrhyw yn nhafodiaith yr Indiaid, hyd y byddo yn bosibl.

Ninnan a ymdrechwn yn ol ein rhan, i gyhoeddi yn ein Swyddfa, *No. 7, Spruce Street, New York*, gan mil o *gopïau* o'r ANNERCHIAD hwn, i'w rhanu yn y wlad hon, yn rhad; a gwnawn yr hyn a allom i'w hanfon i'r llywodraethwyr, seneddwyr, barnwyr, a'r bobloedd; heb adael y gwyr llên yn angof.

*Caerefrog Newydd, Ebrill 6fed*, 1845.

## AT Y DARLLENYDD CYMREIG.

Hysbysir y Cymry, y gellir cael gwybodaeth helaethach o'n hegwyddorion, gan ein pregethwyr, ba rai sydd yn myned ar hyd a lled y dywysogaeth, heb na chyflog na gorfodaeth; a'r sawl a welo yn dda gyfrannu at eu hangenrheidiau, Arglwydd Dduw yr holl ddaear a'i chyflawnder, a'u bendithio am hynny ar eu canfed.

Da fyddai genym gael cyfleusderau, a galwad ychwanegol, i bregethu yr efengyl dragywyddol, ynghyflawnder ei doniau, a'i bendithion i'n brodyr, a'n chwiorydd unwaed, rhwng mynyddoedd Cymru, yn rhad.

Sylwed y darllenydd, mai yn yr Amerig y cyfansoddwyd yr Annerchiad blaenorol, o ganlyniad, *os gellir* cael rhyw dueddiad yn yr iaith, ag a *feddylir* yn anmhriodol i'r wlad hon, cofied mai o'r wlad honno y tarddodd.

Hysbysir y darllenydd, fy mod wedi cyhoeddi Traethawd yn ddiweddar yn gymraeg, o'r enw "YR HEN GREFYDD NEWYDD," yn dangos yr egwyddorion a gredwn. *Pris chwe' cheiniog.*

Hefyd, Traethawd, attebiad i'r prif-wrthddadleuon sydd yn cael eu cynnyg i wrthbrofi yr athrawiaeth a broffeswn. *Pris tair ceiniog.*

Dymunaf ar y Cymry arbed eu barn am ein cymmeriadau dros ychydig etto, a chant brofion digonol, mai celwyddau ydyw yr hyn a gyhoeddwyd am danom yn y "GWIR FEDYDDIWR," y "SEREN GOMER," "YR AMSERAU," &c. Gan fod amryw gabldraethau am danom ni a'n crefydd, wedi eu cyhoeddi gan wŷr, sydd wedi gwrthod cyhoeddi yr amddiffyniad, daw y rheiny allan yn Draethodau byrion, càn gynted ag y ceir cyfleusdra; pa rai a ellir gael gan ein pregethwyr, ac amryw lyfrwerthwyr drwy'r wlad. Ac nid wyf yn ammeu na fydd y Gwirionedd yn barod i ddiolch, fel arferol am ryddid yr Argraff-wasg. Dyoddefed y Saint ychydig etto, ac ymbwylled y byd gyda hwy; a chant weled, mai gwŷn ei fyd yr hwn ni roddes ei farn yn ehud. Yr Arglwydd grasol a fendithio bob dyn, yn enwedig fy nghyd-genedl anwyl.

D. J.

*Rhagfyr 1af*, 1845.

---

CYFIEITHWYD A CHYHOEDDWYD GAN CAPT. JONES.

---

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

